# CAN NEWYDD,

O

## GANMOLIAETH

I

LYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF.

---

Cyfansoddwyd a chyhoeddwyd, trwy ganiatâd,

GAN MARGARET JONES, GEORGETOWN,
(*Sef, Eos Cymru Newydd.*)

---

Duw, bendithia Young a'i deulu;
Yr wyt ti'n caru y rhai hyny;
Ti a'i gwnaethost yn wyliedydd,
Ar dy Eglwys dros y gwledydd:
Ti a'i harweiniaist trwy'r anialwch,
Mynyddoedd creiglyd, a diffaethwch;
Mae etto'n fyw, dan nodded Duw,
Er gwaetha'r griw uffernol,
Ac wedi 'i wneyd yn Llywydd gwladol,
Megys Joseph, ar y bobol.

Duw, bendithia'r Apostolion,
'Rhai gyfrifa'r byd yn 'sgubion,
Er eu bod yn wir genadau,
Yn iawn weinyddu'r ordinhadau ;
Maent hwy heddyw yn llewyrchu,
Mewn tywyllwch fel y fagddu,
Ac o hyd ar hyd y byd,
Yn nghanol llid gelynion,
Yn cyhoeddi cenadwri
I fyd o ddynion mewn drygioni.

'Rwy'n dymuno ar Dad goleuni
I gofio Jones, hen Lywydd Cymru,
Yr hwn a aeth â blaenffrwyth Gwalia;
I mewn i Ddyffryn California;
Er yr haera'r bobl yma
I Jones eu gwerthu oll i Cuba;
Anwiredd yw, mae'r Saint yn fyw,
Dan nodded Duw Gorucha',
Ac wrth eu bodd mewn dyffryn hyfryd,—
O, na ba'em ni yno hefyd!

Duw, bendithia'r Llywydd Phillips,
Yn nghyd a'u deulu 'fyw yn hapus,
Tra byddont yma'n teithio Babel
O cadw hwynt bob dydd yn ddiogel ;
Mae ef megys lamp yn llosgi,
A'i lestr cryf yn llawn goleuni:
Aiff yn mlaen trwy ddwr a thân,
Heb ofni brâd gelynion;
Fe fydd cyn hir ar fynydd Seion,
Yn mhlith y Saint yn gwisgo'r goron!

Duw, bendithia dy holl weision,
'Rhai sy'n traethu 'nawr yn gyson,
Am y dyddiau braf a wawriodd,
Ar dy blant i ddod yn lluoedd;
'Ry'm ni wedi derbyn eisoes,
Blaenffrwyth yr Ysbryd sydd yn gorphwys,
Ar dy Saint,—mawr yw eu braint!
Pa faint a fydd gorfoledd
Pan dywelltir o'r uchelder,
Ar bob cnawd yn ei gyflawnder?

Yr ŷch, a'r llew, cyn hir gyd-borant,
A'r oen, a'r blaidd, a gyd-orweddant,
A'r plentyn sugno 'chwaria'n brysur,
Wrth dwll yr asp, heb un anghysur;
Ar ffrwynau'r meirch yn wir fe welir
Santeiddrwydd pur cyn hir i'r Arglwydd;
Cleddyfau dur a gânt yn wir,
Cyn hir eu troi'n bladuriau;
'N lle gyru'r meirch i blith magnelau,
Cânt gario'r Saint i'w gwychion demlau!

# HIRAETH AM SEION.

TON.—" Gwel yr Adeilad."

Mae'm meddwl wedi ei dynu
O Babel, a'i lwyr ddenu
Tua'r hyfryd wlad ;
A'm cwrdd, gwna Duw i symud ffwrdd,
Bob gelyn etto,
A all fy nhemtio,
Tra byddo'i yn eu twrdd ;
'Nol croesi tònau geirwon,
Caf eistedd wrth y bwrdd.

Mae hiraeth arna'i beunydd,
Am weled Cymru Newydd,
Yn California ;
Mi af trwy gymhorth Duw fy Naf,
O blith gelynion,
A phläau blinion,
Rhai creulon,—bydda'i 'n saff,
Yn mhlith y cwmni dedwydd,—
'Rhai cyfiawn yno saif.

Argraffwyd gan J. Davis, Merthyr.